# Y Cod Plant

## Crynodeb

MAE'CH DATA CHI'N CYFRIF

### Beth yw'r Cod Plant?

Mae'r Cod Plant yn god ymarfer ar ddiogelu data ar gyfer gwasanaethau ar-lein, megis apiau, gemau ar-lein, gwefannau a chyfryngau cymdeithasol sy'n debygol o gael eu defnyddio gan blant.

- Daeth i rym ar 2 Medi 2020.

### Pam mae'r Cod Plant wedi dod i fodolaeth?

- Mae Confensiwn y Cenhedloedd Unedig ar Hawliau'r Plentyn (CCUHP) yn cydnabod bod ar blant angen mesurau diogelu a gofal arbennig ym mhob agwedd ar eu bywyd.

- Dylai llywodraethau sicrhau bod y busnesau sy'n gweithredu yn eu gwledydd yn parchu hawliau digidol plant.

- Mae fersiwn o hawliau digidol plant sy'n addas i blant ar gael yma: : **https://5rightsfoundation.com/In_Our_Own_Words_Young_Peoples_Version_Online.pdf**

- Gofynnodd llywodraeth y Deyrnas Unedig i'r ICO lunio'r Cod Plant, sy'n nodi amddiffyniadau penodol ar gyfer data personol plant.

### Sut mae'r Cod Plant yn gweithio?

- Mae'r Cod Plant yn gyfres o reolau sydd wedi'u bwriadu i wneud y rhyngrwyd yn lle mwy diogel i blant ddysgu, ymchwilio a chwarae.

- Mae'r cod yn ei gwneud yn ofynnol i wasanaethau roi buddiannau gorau'r plentyn yn gyntaf wrth ddylunio a datblygu apiau, gemau, teganau cysylltiedig a gwefannau sy'n debygol o gael eu defnyddio gan bobl ifanc.

- **Sut bydd y cod yn effeithio ar blant a phobl ifanc?**

- Dylai gwasanaethau ar-lein, fel gwefannau, gemau ac apiau, fod yn casglu cyn lleied â phosibl o ddata pobl ifanc yn unig, ac ni ddylent ei rannu. Efallai y bydd plant a phobl ifanc yn sylwi bod eu gosodiadau wedi'u gosod yn breifat yn ddiofyn, bod gwasanaethau geoleoli wedi'u troi i ffwrdd a bod technegau procio wedi'u lleihau.

### Beth yw'r rhestr lawn o safonau'r cod y mae'n rhaid i sefydliadau gydymffurfio â nhw?

Dyma'r safonau:

- **Buddiannau gorau'r plentyn:** Mae angen i wasanaethau ar-lein sy'n debygol o gael eu defnyddio gan blant gael eu cynllunio gyda budd gorau'r plentyn mewn golwg.

- **Asesiadau o'r effaith ar ddiogelu data:** Dylai cwmnïau ar-lein gynnal asesiad o'u gwasanaethau i sicrhau bod hawliau digidol plant yn cael eu parchu.

- **Defnydd priodol i oedran:** Mae angen i gwmnïau ar-lein feddwl sut y gallwch ganfod oedran eich defnyddwyr, er mwyn defnyddio rheolau'r Cod Plant yn gywir.

- **Tryloywder:** Rhaid i bolisïau preifatrwydd gael eu hysgrifennu mewn iaith glir sy'n addas ar gyfer oedran y plentyn.

- **Defnydd niweidiol o ddata:** Peidiwch â defnyddio data personol plant mewn ffyrdd sy'n niweidiol i'w lles.

- **Polisïau a safonau cymunedol:** Cadwch at y telerau, y polisïau a'r safonau cymunedol rydych chi'ch hun wedi'u cyhoeddi (gan gynnwys ymysg pethau eraill polisïau preifatrwydd, cyfyngiad oedran, rheolau ymddygiad a pholisïau ar gynnwys).

- **Gosodiadau diofyn:** Rhaid i'r gosodiadau fod yn 'breifatrwydd uchel' yn ddiofyn.

# Y Cod Plant

## Crynodeb

MAE'CH DATA CHI'N CYFRIF

- **Lleihau data:** Dim ond y lleiafswm o ddata personol sydd ei angen arnoch i ddarparu elfennau o'ch gwasanaeth lle mae plentyn yn cymryd rhan weithredol a phersonol y dylech ei gasglu a'i gadw. Rhowch ddewisiadau i blant ynghylch pa elfennau yr hoffen nhw eu rhoi ar waith.

- **Rhannu data:** Peidiwch â datgelu data plant oni bai bod hynny'n angenrheidiol ac er budd gorau'r plentyn.

- **Geoleoli:** Diffoddwch opsiynau geoleoli yn ddiofyn a rhowch arwydd amlwg i blant pan fydd dulliau tracio lleoliad ar waith.

- **Rheolaeth rhieni:** Os ydych chi'n darparu rheolaeth rhieni, rhowch wybodaeth am hyn sy'n briodol i oedran y plentyn. Os yw'ch gwasanaeth ar-lein yn caniatáu i riant neu ofalwr fonitro gweithgaredd ar-lein eu plentyn neu olrhain lleoliad eu plentyn, rhowch arwydd amlwg i'r plentyn pan fydd yn cael ei fonitro.

- **Proffilio:** Diffoddwch opsiynau sy'n defnyddio proffilio yn ddiofyn (oni bai eich bod yn gallu dangos rheswm cymhellol dros osod proffilio ymlaen yn ddiofyn, gan ystyried buddiannau gorau'r plentyn). Dim ond os oes gennych fesurau priodol ar waith i amddiffyn y plentyn rhag unrhyw effeithiau niweidiol (yn arbennig, cael eu bwydo â chynnwys sy'n niweidiol i'w hiechyd neu eu lles) y dylech chi ganiatáu proffilio.

- **Technegau procio:** Peidiwch â defnyddio technegau procio i arwain neu annog plant i ddarparu data personol diangen neu i wanhau neu ddiffodd eu hamddiffyniadau preifatrwydd.

- **Teganau a dyfeisiau cysylltiedig:** Rhaid i deganau neu ddyfeisiau cysylltiedig gydymffurfio â'r cod.

- **Offer ar-lein:** Darparwch offer amlwg a hygyrch i helpu plant i arfer eu hawliau diogelu data ac i roi gwybod am bryderon.

### Ble i gael rhagor o wybodaeth am y Cod Plant:

Ewch i: **https://ico.org.uk/your-data-matters/the-children-s-code-what-is-it/**

**https://ico.org.uk/for-organisations/childrens-code-hub/**

### Beth dylai rhywun ei wneud os yw'n sylwi ar wefan neu ap sy ddim cadw at y Cod Plant?

Dylid cysylltu â'r gwasanaeth yn uniongyrchol yn y lle cyntaf ac os nad ymdrinnir â'r ymateb yn ddigonol, dylid rhoi gwybod i'r ICO am unrhyw wasanaeth ar-lein yr amheuir nad yw'n glynu wrth y cod yn **https://ico.org.uk/make-a-complaint/**

